Presented to
President F. D. Richards
by his
Humble servant
The Author

# ANFFYDDIAETH SECTYDDIAETH!



Afresymol yw haeru fod mwy nag un *wir* grefydd; o herwydd cyn y gall fod yn *wir*, rhaid ei bod yn ddwyfol; cyn y gall fod yn ddwyfol, rhaid fod iddi *awdwr* dwyfol; os dwyfol ei hawdwr, yna y mae yn berffaith, *anffaeledig*; perffeithrwydd y grefydd a arddengys berffeithrwydd ei hawdwr. Addefir mai amcan crefydd yw perffeithio ei hufyddion hyd berffeithrwydd ei hawdwr; ac y caiff yr achos perffaith yr effaith ddymunol i berffeithio yn gyferbyniol i'r ymwneuthuriad â hi, yw y cymhelliad sydd ynddi i achosi ymgrefydda; o ganlyniad, gan nad oes ond un safon gywir o berffeithrwydd, yna nid oes ond un grefydd berffaith i berffeithio. Gan fod perffeithrwydd yn arwyddo, tu hwnt i welliant, os oedd crefydd berffaith yn anhebgorol er perffeithio ereill gynt, paham nad yw perffeithiad pob un yn dibynu ar gael yr un grefydd berffaith i'w berffeithio. Os gellir ateb y dyben hyny heb grefydd, yna y mae crefydd yn afreidiol; ac os afreidiol y grefydd, anmherffaith yr awdwr o honi! A dyna anffyddiaeth.

Dweyd fod awdwr perffaith wedi gwneyd dwy, heb son am gannoedd, o grefyddau i berffeithio dyn, yw ei gyhuddo o gyfnewidioldeb, ac o fod wedi gwneyd yr oll ond un yn afreidiol: canys, os oedd un yn berffaith yna yr oedd yn alluog ac addas i ateb pob dyben i berffeithio pob un, yn mhob man, ac o dan bob amgylchiad, â ufyddhauai iddi. Y mwynhad o un grefydd felly a brofai yr oll ereill yn afreidiol. Yr unig ffordd i ochelyd yr anffyddiaeth yna yw cyfaddef ein gosodiad, y fod dwyfoldeb crefydd yn profi ei hunigolrwydd yn hunan-eglur. Ei hunigolrwydd hi a brofa y fod pob crefydd a wahaniaetha oddiwrthi yn au-grefydd. Gwir y dichon cam-ddealltwriaeth o honi achosi i ddyn ei meddwl hi yn wahanol; eithr cywirdeb ei syniadau am dani, a'i dengys hi yn unol â'r safon hanfodol a diysgog o honi.

Er cyflawni dyben Duw drwy grefydd, sef perffeithio dyn, rhaid fod rhyw sylwedd ynddi, neu mewn cyssylltiad a hi er dwyn yr effaith hono. Mae i bob effaith ei achos priodol, eithr y mae mor anmhosibl fod effaith heb achos o hono, na bod achos heb ei fod yn sylweddol, ac a fyddai i ddiddymdra i effeithio ar ddiddim ac esgor ar sylwedd. Nid *crefydd*, ond *di*grefydd neu AN-nghrefydd yw y *broffes* heb y *sylwedd* perffeithiol, perthynol i, ac anhebgorol er i grefydd berffeithio. Y sylwedd hwn nid dynol ond dwyfol yw; a elwir yn "Ysbryd Glân," "y Dyddanydd," Ysbryd yr Arglwydd, Ysbryd Duw, Ysbryd Crist, &c. I'r diben o gyflwyno hwn i ddynion mae dwyfol gyfundrefn, ufydd-dod cywir i'r iawn weinyddiad o'i hordinhadau a ddyry ddyn yn y cyflwr a'r agwedd gymmeradwy i'w gael;—gwybodaeth cywir o, ac awdurdod ddwyfol i weinyddu y rhai hyny ydynt gymhwysderau anhebgorol er llwyddo. Arddodiad dwylaw yr Henuriaid yw yr ordinhad, drwy ba un y ceir dawn yr Ysbryd Glân; eithr y mae Ysbryd Duw mor bur a santaidd fel na phreswylia ynghalon pechadur anedifeiriol; etto, trefnodd Duw ffordd i faddeu ei bechodau trwy gael ei fedyddio "ER maddeuant," a'i fabwysiadu yn blentyn iddo ef fel y gallai dywallt ei Ysbryd ar led yn ei galon i lefain Abba Dad. Eithr ni faddeuir ei bechodau pe bedyddid ef ganwaith, oddieithr fod penderfyniad ynddo i ymadael a phechod hyd y gall—yr hyn yw edifeirwch: ni all edifarhau yn wirioneddol hyd oni argyhoedder ef o fawr-ddrwg ac atgasrwydd pechod, crediniaeth yn offrymiad bywyd Mab Duw, o herwydd pechodau rhai ereill, a ffurfia ddrych cywir ac effeithiol i argyhoeddi pob dyn rhesymol o atgasrwydd pechod, nes ei ffieiddio ac ymwrthod ag ef; eglur y gwelir ynte ddoethineb Duw, trwy ffolineb pregethu yn cadw y rhai sydd yn credu, ac yn gwneyd yr hyn bethau a ddysgir iddynt gan bregethwyr dwyfol ddanfonedig.

Dyna ddarluniad byr a chywir o ffordd yr iechydwriaeth, o ammodau y mabwysiad, neu o'r ymadroddion sydd yn dechreu dynion yn unig wir grefydd Iesu Grist, ac yn eu dwyn yn aelodau o'i eglwys neu ei deyrnas ar y ddaear: ac efallai y cydsynir â ni hyd yma gan fwy o'n darllenwyr nac a gydwelant a ni yn y gosodiad nesaf; sef,—*Y Doniau Ysbrydol* hyny a addawyd gan Iesu Grist i'r holl wir gredinwyr ynddo ef; a pha rai yn ol yr hanesion, rhy aml eu difynu yn y traethawd bychan hwn, ond

a geir yn britho y Testament Newydd, a brofant nerthol weithrediadau Ysbryd Duw drwy y doniau hyny a arddanghosent rym a nerth eu crefydd hwy: hyn oedd y bywyd oedd ynddi, y dylanwadau hyny a burai eu meddyliau, a santeiddiai eu heneidiau, ac a wnai bob peth a wnelid gan grefydd ynddynt, drwyddynt, ac erddynt; ac hebddo nid oedd santeiddiad neu berffeithiad; ac heb hyny nid oedd crefydd. Gwadu yr anghen o'r doniau ysbrydol hyn sydd gyfystyr â gwadu yr anghen o'r Ysbryd au hachosa; canys dyna ei ffordd o weithredu; a honi crefydda heb Ysbryd crefydd sydd anffyddiaeth dan orchudd rhagrith. Un peth yw gwadu gweithredoedd yr Ysbryd drwy y doniau a gwadu yr Ysbryd a'u hachosa. a'r un peth yw hyny a gwadu crefydd yn hollol, o herwydd dyna yw crefydd: ac ni ddichon "*crefyddwyr*," fel y galwant eu hunain, deilyngu gwell enw nag anffyddwyr, tra yn gwadu yr anghen am y naill neu'r llall; o herwydd anhebgorol yr oll er cael crefydd.

Er mor amlwg yw y gwirioneddau hyn; er fod yr ysgrythyrau wedi eu gwau a'u cordeddu o honynt; er y gorfodai y rheswm a roddodd y Creawdwr i ddyn, ef i weled y pethau hyn yn eglur, debygid; ac er na ddyry ysgrythyr na rheswm un meddylddrych i neb fod dim arall yn wir grefydd ond hyn; etto, gyda syndod mawr dywedwn, pe bai rhywbeth a wnelai y cyfryw yn destun synu, ni ellir byth braidd sefyll uwchben cynnulleidfa i bregethu crefydd, a cheisio argyhoeddi cyd-ddyn o'i fawr anghen am grefydd, nad eu hatebiad parod fydd yn y fan, yn enwedig os buasent hwy mewn capel, ysgol Sul, neu yn darllen esboniadau, "O, y mae y doniau ysbrydol yna wedi darfod er oes yr apostolion, ac nid oes eu hanghen mwyach; eu hunig ddyben oedd er sefydlu Cristionogaeth." Ceir hyn mor barodol oddiar flaen pob tafod braidd, ag yw ystori fach y parrot: ac adroddant hi o'r naill i'r llall fel y gwna y parrot, heb nemawr fwy rheswm ynddi, na dealltwriaeth o barthed iddi! Goleuni mwyaf yr oes grefyddol yn ngwlad y Biblau, yn haeru yn ben uchel nad oes dadguddiadau, a doniau ysbrydol, yr hyn yw gwreiddyn a changau yr oll o'r "ffydd hono a roddwyd unwaith i'r Saint:" ac ar yr un pryd yn proffesu mai hono yw yr unig ffydd gywir! Ni allwn ddychymmygu am ddim tebycach i anffyddiaeth nâ hyn, heb son am afresymoldeb croeshaeriadol y fath dwyll-resymeg!

Yr anffyddiwr proffesedig a gyfaddefa yn onest nad oes anghen am ddatguddiadau amgen nac sydd yn "*Llyfr Mawr Natur.*" Credant ddarfod i'r "Achos mawr cyntaf," osod i'r holl elfenau drwy'r bydysawd eu deddfau sefydlog i'w llywodraethu, ac y mai goleuni rheswm yw deddfau llywodraethol dynolion; eithr haera y rhywogaeth bresennol o "Cristionogion," er fod datguddiadau a doniau ysbrydol yn anhebgorol er i gyn oesoedd mwy paganaidd allu iawn grefydda a bod yn gadwedig; etto nad oes anghen hyny arnynt hwy, eu bod ddigon galluog a gwybodus hebddynt ac am hyny eu bod wedi darfod! O'r ddau y mae hyn yn waeth nac anffyddiaeth broffesedig; canys cyfaddefa yr olaf ddadguddiadau parhaus o allu a doethineb y Crewr mawr, yn mhob peth o'i amgylch; ac felly y mae ei Dduw ef yn Dduw presennol yn ei amlygiadau o hono ei hun. Eithr y cyntaf, er y dylai, yn ol ei broffes, fod ganddo safon berffeithiach i'w ffydd; etto Duw a fu ac nid Duw presennol o addola efe. Nid oes gan ei Dduw ef gymmaint awydd i achub neb o'r mil miliynau o'i blant ag sydd yn cael eu hysgubo yn dô ar dô i fyd arall yn anwybodus o hono, ac o'i grefydd ef, fel ac i ddatguddio gair o'i feddwl nai ewyllys, i roi gair o gyfarwyddyd iddynt nac i anfon cenad atynt: digon yn ei olwg ef oedd iddo wneyd hyny er's canrifoedd yn ol i bobl ereill; er ei fod yn deall yn burion, ebe efe, fod yr oll yn ymbalfalu yn y tywyllwch am y ffordd iawn. Nid yw yr anffyddiwr mor anghyson a gwadu dadguddiadau presennol; eithr camsyniad y cyfryngau, sef natur; eithr am y sectyddwr selog ni chaniata i'w Dduw gyflwyno dadguddiadau yn awr i neb drwy ei Ysbryd, er ei fod yn proffesu y medda efe yr Ysbryd hwnw ar yr un pryd; a dywed wrth y llall ei fod yn anhebgorol er cadwedigaeth! Ac felly, nid yn erbyn yr Ysbryd y mae efe, eithr yn gwahardd i'r ysbryd *lefaru* ynddo, na gwneyd un dim erddo! Efe a ganiata iddo lechu yn ddystaw fach a dirgelaidd yn rhyw gilfach o hono; ïe, efe a weddia yn daer a selog am dano, ond iddo, wedi dyfod, ofalu peidio llefaru gair er dim, canys byddai hyny yn "*ddadguddiad,*" ac o ganlyniad yn dwyll haerllug, cyn waethed ag eiddo y Mormoniaid! Etto rhaid iddo ei gael ei hunan, yn ysbryd mûd a dieffaith! Dyma yw ysbryd cristionogaeth yr oes!

Mai trwy ddadguddiadau presennol a pharhaus y llywod-

raetha Duw bawb a phob peth; ac mai anmhosibl iddo lywodraethu na chario ei waith yn mlaen heb hyny, a brofir i ni gan bob cyffelybiaeth a ffaith yn ddiwrthbrawf; y mae ein bodoldeb ein hunain yn profi mai "ynddo ef yr ydym yn byw, yn ymsymud ac yn bod;" eithr yn eglurach, profa hanesion ysgrythyrol, a natur pethau, a'u cyssylltiadau, mai trwy ddadguddiadau parhaus, drwy ei Ysbryd y cariai efe yn mlaen ei waith a'i lywodraeth ysbrydol, am bedair mil o flwyddi yn olynol. Nid oes genym hanes ac ni allwn ddirnad y posiblrwydd iddo sefydlu, na chario yn mlaen nac eglwys na chrefydd heb hyny; nac ychwaith achub un dyn byth.

Yn y rhai a broffesant grefydd,—a gyfaddefant mai dyben crefydd yw achub dyn,—ei berffeithio i fod yn addas i breswylio gyda Duw, ac o ganlyniad, yn ddarostyngedig i'w gyfraith, a hollol ufydd i'w ewyllys; yn y rhai hyny i haeru nad oes eisieu dadguddiadau Ysbryd Duw, yr hyn yw yr unig foddion i hyny, hyd nes y byddo y gwaith hwnw wedi ei gwblhau, a'r diweddaf o hîl Adda wedi ei berffeithio ganddo, a dyfod yn hollwybodol drwyddo, sydd gyfeiliornad mor huan eglur—mor afresymol, fel y rhyfeddwn fod un creadur rhesymol yn yn ei gredu, heb sôn am ddysgedigion, doethion dynol, duwinyddion, a holl athrawon crefyddol yr oes oleu hon, fel ei gelwir, gan wadwyr dadguddiadau o'r goleuni oddifry. Yn y rhan ysbrydol, fel yn mhob cyfran o lywodraeth Duw, y mae yr effaith mor ddibynol ar, a chyssylltiedig â'r achos, fel na ddichon i'r naill fodoli heb y llall, mwy nag y gall cysgod fodoli heb sylwedd i'w achosi.

Ymddengys anghyssondeb proffeswyr crefyddau Cymru yn amlwg iawn yn eu proffes o grefydd, ac ar yr un pryd yn haeru fod yr hyn yw sylwedd, grym a hanfod ol enaid crefydd, "wedi darfod, nad oes mwyach ei eisieu!" Haerant fod y prif nodweddau arddangosiadol o'r wir eglwys apostolaidd wedi diflanu a'i hysbryd hi wedi marw, neu gysgu, neu golli ei leferydd, ac fod ei hardderchogrwydd penaf wedi myned rhy anmhoblogaidd i'w chwenychu; "nad oes neb ond y Mormoniaid haerllug ac anghristionogol yn ei geisio nac yn gweled ei anghen mwy, yn yr oes oleu hon, ac y fod hyny yn eu profi hwy mewn tywyllwch fel y fagddu." Ac â'r anadl nesaf haerant eu bod hwy oll yn meddu yr eglwys a'r grefydd hono yn ei phurdeb, ac fod eu tadau duwiol o'u blaen, o bob sect yn ei meddu, ac wedi eu

duwioli a'u hachub drwyddi! Ac yn wyneb galed, ac a phen agored baeddir Paul yn mlaen i gondemnio y Mormoniaid am bregethu rhyw efengyl arall, a chyhoeddir Anathemau arnynt am hyny; heb ystyried nemawr mai yr un efengyl a bregethwyd gan Paul a bregetha y "Mormoniaid" yn gywir; nac mai o herwydd honni bendithion a dadguddiadau efengyl Paul y condemniant hwynt; nac mai eu hunain sydd yn teilyngu yr Anathema mor gyfiawn ag yr oedd Dafydd pan roddodd y ddedfryd arno ei hun. Mynych y dyfynant Paul i brofi fod Efengyl Iesu Grist yn *allu Duw* er iechydwriaeth; ac ar yr un pryd fel pe yn bwrpasol i groesi hyny haerant fod gweithrediadau Ysbryd Duw a arddanghosai ei ALLU "yn afreidiol," ac ysgymmunant o'u synagogau, am hereticiaid Mormonaidd, un dyn a feiddia fod mor haerllug a dweyd fod anghen y GALLU hwnw yn awr, eithr y ceir iechawdwriaeth hebddo! Darllenant yn Epistol Paul at yr Ephesiaid Pen. iv. Mai prif roddion Pen mawr ei eglwys i'w Saint ar ol ei esgyniad i'r nefoedd oeddent, swyddogion ysbrydoledig i'w dysgu yn ei ewyllys a'i gynghor, yr hyn a addawodd gyflwyno iddynt o bryd i bryd, yn llin ar lin, drwy gyfrwng dadguddiadau dyddorol drwy ei Ysbryd drwy brophwydoliaeth, gweledigaethau, tafodau, cyfieithiadau a phob cyfrwng arall a ystyriai yn angenrheidiol. Darllenant mewn geiriau pendant mai dyben yr oll oedd, er cario ynmlaen ei weinidogaeth eglwysig, ac mai y dyben o hyny oedd, "er perffeithio y Saint." Cyfaddefant, a hawdd y gallant os eu hunain yw y Saint, nad ydynt wedi cyrhaedd y perffeithrwydd amcanedig, nac wedi cyrhaedd "undeb ffydd na gwybodaeth Mab Duw." Etto haerant fod y swyddau ar doniau a ystyriai Crist, naill a'i yn anhebgorol i hyny, neu yn ffolineb eu hamcanu i hyny, yn afreidiol yn awr! Pa beth a ddywedwn er argyhoeddi dynion o'r fath groeshaeriadau gwrth-gristiol? Beth a ddichon neb ddweyd! Awdwr grasol gwir grefydd a dosturio wrth eu cyflwr gresynus ac a baro fod rhyw belydrau o ysbryd y gwirionedd yn dilyn yr ymdrech hwn neu ryw gyfrwng arall, i beri gwawl ar ol nos hir dudew ar eu meddyliau, druain!

Mae yr haeriad poblogaidd a "christionogol" hwn, nid yn unig yn wrth-Gristaidd, eithr hefyd yn gableddus, drwy haeru fod y moddion dwyfol a ordeiniwyd gan Dduw er iachawdwriaeth dyn yn afreidiol, ac y fod doethineb a medrusrwydd

dynol, dysgeidiaeth golegawl, ac esboniadau y tadau, yn well a mwy anghenrheidiol, i addasu dynion i breswylio gydag ef yn ei nefoodd, nag ydyw dylanwadau ei ysbryd anffaeledig Ef. Beth amgen yw hyn na honi anymddibyniaeth ar yr Ysbryd Glân, yr hwn yw y santeiddydd.—ar Fab Duw, yr hwn yw yr unig Waredydd, ac ar Dduw Dad, yr hwn a'i danfonodd ef i gynnyg yr iachawdwriaeth a wrthodir ganddynt! A pheth amgen yw honi afreidiolrwydd y rhai hyny, nag anffyddiaeth? Pa anffyddiaeth waeth na honi eu bod hwy yn ddigon doeth i sefydlu eu heglwysi, a'u dwyn i'r radd uchaf o berffeithrwydd fel ag y mae dadguddiadau oddiwrtho, a doniau ei Ysbryd yn afreidiol?

Gwel ein cyfeillion "Cristionogol" eu gwynebau, mewn drych cywir os darllenant yn Dad. iii. 14—21. Eglwys *y* Laodiceaid, ac nid Eglwys Crist *yn* Laodicea, oedd wedi myned i'r fath glaearineb andwyol; yr oedd wedi myned mor gyfoethog ag *eglwysi* y gwahanol enwadau presennol. Yr oedd y Laodiceaid yn ystyried eu hunain mor gyfoethog o ddoethineb ddynol, yr hyn mewn gwirionedd oedd eu tlodi, nes gwrthod doethineb Duw drwy ei Ysbryd yn ei ddoniau; ac fel sectau ein gwlad ymgynefinasant â, a phenfeddwasant ar rith o grefydd, hyd nes na wyddant eu bod yn druan, yn resynol yn ngolwg Duw, yn dlawd, yn ddall, ac yn noeth. Nid cyfoethog yw y rhai a wrthodant ddoniau yr Ysbryd—cyfoeth y nef; eithr y mae pob peth mewn crefydd yn anghen arnynt, pan yr ystyriant y rhai hyn yn "afreidiol."

Yn mhellach, gwelir afresymoldeb gwadu Prophwydoliaeth, tra yn cyfaddef tystiolaeth yr Iesu yn anghenrheidiol er iachawdwriaeth; o herwydd tystia Ioan yn y Dadguddiad, mai "tystiolaeth yr Iesu yw ysbryd y brophwydoliaeth." Pa brofion eglurach o'u bod yn ddall a ddichon deillion ddangos, na'r fath wrth-ddywediad! Addawodd Iesu Grist y byddai i'r arwyddion hyn ganlyn y credinwyr, heb eithrio oes na gwlad. Haeru "yr arwyddion hyn ni chanlynant, ac nid oes eu heisieu mwyach, yw haeru y celwydd yn ddiwisg yn ei wyneb! Beth haerllugach a haera unrhyw *Infidel?* Deisyfwch y doniau goreu, ebe Paul;—esgymunwch y neb a ddeisyfa ddoniau o'ch plith am heretic Mormonaidd, ebe y rhai a honant fod yn frodyr i'r un Paul, ac yn pregethu yr un efengyl! "Na waherddwch lefaru â thafodau newyddion," ebe Paul. "Ymunwn

oll o bob plaid, a gwaharddwn lefaru â thafodau newyddion o ben pob pwlpud, a gwahardder pawb eu deisyf," ebe 'gweinidogion efengyl Paul" yn awr! Eithr pa wiw ymhelaethu, onid allem fel hyn, o un i un, brofi eu bod yn gwadu braidd bob migwrn ac asgwrn, aelod a chymmal, o'r traed i'r pen, o "gorff Crist," tra yr haerant eu bod yn rhan o hono ac yn ei bregethu yn gywir! O fewn llyn tro, ymenydd dyn ni chaed eirioed ragrith haerllugach.

Y grediniaeth boblogaidd a glywir yw, "Mai er sefydlu cristionogaeth yr oedd y doniau ysbrydol" y pryd hyny, a chan fod cristionogaeth wedi ei sefydlu, nad oes eu heisiau mwyach! Eithr cynnysgaeth Duw i'w eglwys, yw cristionogaeth; ei eglwys yw ei deyrnas ar y ddaear, pob aelod o'r hon a ddylent fod yn ufydd ddeiliaid i'w lywodraeth; ei offeiriadaeth ef, yr hon a gyflwynir i'r gwahanol swyddwyr, megys i Apostolion, Prophwydi &c. yw yr hawl i lywodraethu oddi tano ef, ac ei ysbrydoliaeth, ei ddadguddiadau a'i brophwydoliaethau Ef iddynt a thrwyddynt yw nerthoedd a gallu y llywodraeth hono, a'r holl ddoniau ysbrydol yw "bara y plant" yn y deyrnas hono: o ganlyniad. yr holl bethau hyn ynghyd yw cristionogaeth; yna yr un peth yw dweyd mai er sefydlu cristionogaeth y rhoed y pethau hyn gynt a dweyd fod cristionogaeth wedi ei rhoddi gynt er sefydlu cristionogaeth! Neu ddweyd mai dyben Duw yn rhoddi cristionogaeth i'r byd oedd er iddi i ymsefydlu ei hun; ac felly unpeth yw dweyd fod y swyddau a'r doniau hyny yn afreidiol yn awr a dweyd fod cristionogaeth yn afreidiol yn awr. A yw gwiw gofyn i'n cyfeillion sectyddol beth, yn enw rheswm a feddyliant oddiwrth rhyw groes haeriadau fel hyn! A'i meddwl y maent fod cristionogaeth wedi cael ei sefydlu yn ddigon cadarn? Os ïe, pa le y mae hi, a pha le y ceir neb y honynt heb ei gwadu hi a'i grym, a'i hardderchogwydd gwreiddiol? Os yw hi wedi ei sefydlu ddigon cadarn yn y naill fan onid gwell fyddai ei sefydlu hi mewn man arall hefyd; ïe, yn mhob man drwy'r byd? Os felly, paham nad oes eisieu y cyffelyb offerynau a moddion er ei sefydlu yn mhob man ac oedd mewn un man,—yn mhob oes ag oedd yn unrhyw oes, a than bob amgylchiad ag y cyfaddefir eu bod yn anhebgorol er ei sefydlu yn iawn mewn man, oes, ac amgylchiad arall? Os nad oes eisieu sefydlu cristionogaeth yn y gwledydd Paganaidd paham yr holl gasglu arian i'r dyben hyny.

Yn olaf, tystiwn fod Eglwys Dduw wedi cael ei hadferyd a'i holl ddoniau gyda hi, fod ei drws yn agored a gwahoddiad i chwithau ddyfod i mewn; bodoldeb pa rai sydd ffaith ddwyfol i brofi yr anghen o honynt, dyweder a fyner. A ammheuo, deued a gweled, clywed, teimled, a mwynhaed hwy ei hunan. Pa wiw dadleu yn hwy!

---

Argraffwyd a Chyhoeddwyd gan D. Jones, 14, Castle-Street, Merthyr.

